University of Wales—Prifysgol Cymru

22

THE

# BULLETIN

of the

# Board of Celtic Studies

VOLUME IX



CARDIFF
THE UNIVERSITY OF WALES PRESS BOARD

HUMPHREY MILFORD
OXFORD UNIVERSITY PRESS
1939

lawysgrifau ... llenyddiaeth mewn ardal arbennig ... y gwŷr a ymddiddorai mewn llenyddiaeth mewn ardal arbennig yn rhoi benthyg llawysgrifau i'w gilydd, a phob un yn codi o'r rheini yr hyn yr oedd arno eu heisiau. Felly, ar wahân i rai mân gyfnewidiadau personol ar ran y copiwyr, y mae darlleniadau llawysgrifau'r ardal honno yn dilyn ei gilydd yn bur agos.

7. Ceir bod dwy neu ragor o lawysgrifau ambell dro yn cynnwys copi o gywydd na ddigwydd yn unman arall. Ni cheir y cywydd 'Lluniais fynd draw yn llawen' ond yn G. 3 a P. 99. Y mae hyn yn awgrym fod rhyw berthynas rhwng y ddwy lawysgrif hyn, a chadarnheir hyn gan amryw brofion eraill, megis cyfatebiaeth y darlleniadau, a bod y ddwy unwaith yn eiddo i deulu William Maurice o Lansilin. Wedyn dyna 'Boreddydd bu wawr eiddun', na ddigwydd ond yn P. 49, H. 26 a Ll. 133, a gellir profi bod rhannau o'r llawysgrifau hyn yn perthyn i'w gilydd. Ofer amlhau enghreifftiau.

Dyna rai o'r prif bwyntiau a'n cynorthwya i ddosbarthu a deall gwerth cymharol y llawysgrifau barddoniaeth. Gorau po fwyaf o'r amodau uchod a gyflawnir, wrth reswm, ac anaml y mae'n ddiogel bodloni ar gyflawni un neu ddwy ohonynt yn unig. Y man cychwyn bob tro yw cymharu darlleniadau dwy neu ragor o lawysgrifau. Os gwelir eu bod yn ymdebygu'n weddol gyson, a hynny mewn nifer go fawr o gerddi, fe fydd bob amser brofion eraill o berthynas rhyngddynt, a gorau po fwyaf o brofion felly a geir.

Bangor. THOMAS PARRY.

## LAILOKEN A LLALLOGAN

Yng nghanu Llywarch Hen ceir y ddwy linell a ganlyn:

> *Llallogan*, ni wn ai hi.—*C.Ll.H.* 22.
> Ac ni wn ai hi, *laallawg*.—*C.Ll.H.* 22.

Lleferir hwy gan Lywarch Hen wrth y pendefig yn y darn *Gwahodd Llywarch i Lanfawr*. Eglura'r Athro Ifor Williams *llallogan* fel bachigyn o *llallawg*, gan ddeall y naill ffurf a'r llall fel 'enw . . . a ddefnyddid wrth gyfarch yn gyfeillgar', ac awgryma mai eu hystyr yw '*brawd*, *cyfaill*, *arglwydd*, *enaid*, *unben*, unrhyw un o'r geiriau cyfarch arferol'.[1]

[1] *C.Ll.H.* 155–6.

Digwydd y ffurfiau hyn amryw weithiau yng *Nghyfoesi Myrddin a Gwenddydd*. Wele'r enghreifftiau: Kyuarchaf ym clotlew *llallawc*;[1] clotleu *llellawc*.—*R.P.* 2a30; Kyuarchaf ym *llallogan* vyrdin.—*R.P.* 1b12; *Llallawc* kan amhatebyd.—*R.P.* 4a36; *Pen. 3*, 192; *Llallawc* kan amdiderbyd.—*R.P.* 4a42; *Pen. 3*, 202.

Wrth eu trafod yn *C.Ll.H.* 155–6, cyfeiria'r Athro Ifor Williams at y chwedl Ysgotaidd am '*Laloiken*, gŵr gwyllt fel Myrddin' a geir ym Muchedd Cyndeyrn, ac at gynnig T. Price (Carnhuanawc) mai'r un gair yw *llallogan* a *Laloiken* ac mai 'brawd gefell' yw ystyr *llallogan*.[2] Dywed yr Athro Williams na welodd erioed brawf fod *llallogan* yn golygu 'twin-brother', ac mai 'casgliad neu ddyfaliad yw am ei fod i'w gael yn y *Cyfoesi* ochr yn ochr â brawd; a'i fod hefyd yn debyg i darddair o *llall*'. Myn ymhellach fod y chwedl a geir am *Laloiken* ym Muchedd Cyndeyrn yn rhy wahanol i'r chwedlau Cymraeg am Fyrddin i gyfiawnhau tybio bod unrhyw gysylltiad rhyngddynt a'i gilydd.

Ceir y ffurfiau Cymraeg ar chwedl Myrddin mewn pump o ganeuon, tair yn Llyfr Du Caerfyrddin, sef *Ymddiddan Myrddin a Thaliesin*, yr *Afallennau* a'r *Hoianau*, a dwy yn Llyfr Coch Hergest, sef y *Cyfoesi* a'r *Wasgargerdd*. Ceir testunau o'r *Afallennau*, yr *Hoianau* a'r *Cyfoesi* hefyd yn llawysgrif *Pen. 3*, ond bod tua 144 llinell ar ddechrau'r *Cyfoesi*, sef traean y gerdd, ar goll yno. Ceir testun arall o'r *Wasgargerdd* yn *Pen. 12*, a argraffwyd yn *Cy.* vii. 151. Amserir *Pen. 3* a *Pen. 12* oddeutu 1300.

Saif yr *Ymddiddan* ar ei ben ei hun. Y mae ei gynnwys mor wahanol i gynnwys y caneuon eraill fel na raid i ni ei drafod. Ceir peth amrywio ar ffurfiau'r chwedl yn y pedair cân arall, eithr yr un stori sy'n sail iddynt i gyd. Y mae dwy elfen wahanol yn y caneuon hyn, sef elfen chwedlonol ac elfen hanesyddol neu frudiol. Gallwn fentro mai'r elfen chwedlonol ynddynt sydd hynaf a'u bod wedi tyfu ac ymgyfnewid o oes i oes. Myrddin sy'n llefaru yn yr *Afallennau* a'r *Hoianau*. Ar ddechrau'r pennill ceir ganddo, fel rheol, sylwadau ar ei hanes a'i helyntion ef ei hun, ac agorir pob pennill gyda fformiwla ystrydebol. Y mae ef yn awr yn byw mewn trueni ac unigedd yng Nghoed Celyddon. Ei unig gydymaith yw'r porchell ac ato ef neu at yr afallen beren y cyfeiria ei gwynion. Bu unwaith yn uchelwr urddasol yn derbyn nawdd ei arglwydd Gwenddolau, ac ym mrwydr Arfderydd gwisgai dorch o aur am ei wddf. Eithr ym mrwydr Arfderydd lladdwyd Gwenddolau a daeth dyddiau blin ar Fyrddin. Am

[1] *R.P.* 1b26, 30; 2a4; 2b2, 7, 36, 40; 3a2, 7, 12; 3b23, 27. Gw. hefyd *Pen. 3*, 15, 21, 28, 34, 43, 113, 119. Cyfeirir at rif y llinellau yn *Pen. 3*. Am y testun gw. *B.* iv. 114.

[2] *Hanes Cymru*, 208–9; *Lit. Remains*, i. 143.

ddeng mlynedd a deugain wedi'r trychineb bu'n byw mewn gwallgofrwydd gyda'r *gwyllon*[1] yng Nghoed Celyddon yn galaru am golli ei arglwydd Gwenddolau, yn ofni erledigaeth Rhydderch Hael ac yn galw ar Dduw am gael marw. Y mae yn y caneuon hyn hefyd gyfeiriadau tywyll at bethau eraill, a dengys y Trioedd yn eglur fod cyfres o chwedlau am frwydr Arfderydd a'r gwŷr a gymerai ran ynddi, ac am ei chanlyniadau, wedi mynd ar goll. Gwallgofodd Myrddin yn y frwydr honno a ffoi i'r goedwig. Yr oedd a fynnai'r anffawd a ddigwyddodd iddo, mewn rhyw fodd neu'i gilydd, â Gwenddydd, â Rhydderch Hael ac â '*gwassauc* gwaessaf Rydirch'.[2] Llethir ef gan euogrwydd oherwydd bu'n gyfrifol am ladd mab Gwenddydd,—pa fodd yn hollol, ni ddywed y caneuon. Gwaith beiddgar yw ceisio adffurfio'r chwedl o'r darnau briw ohoni a adawyd eithr nid yw'n annheg tybio, er na ddywedir hynny'n bendant yn unman yn y caneuon Cymraeg, fod Rhydderch Hael[3] wedi ymladd ym mrwydr Arfderydd ar yr ochr a wrthwynebai Fyrddin a Gwenddolau, mai plaid Rhydderch a drechodd ac mai dyna paham y mae ei enw yn ddychryn i Fyrddin yn y goedwig. Wedi iddo golli ei bwyll syrthiodd mantell proffwyd ar Fyrddin, ac yn y rhan fwyaf o benillion yr *Afallennau* a'r *Hoianau* fe geir, ar ôl ychydig linellau o gwyno ac o gyfeiriadau personol, gyfres o broffwydoliaethau am ffawd y Cymry yn yr ymladd hir rhyngddynt a'r Normaniaid. Y penillion hyn oedd propaganda politicaidd yr oes honno. Atgyfodid hen ddaroganau a llunio rhai newyddion, a thadogid hwy oll ar Fyrddin oherwydd yr awdurdod a oedd i'w enw.

Cyfres o englynion ymddiddan yw'r *Cyfoesi*,—Gwenddydd yn holi a Myrddin yn ei atebion yn proffwydo enwau brenhinoedd y Cymry. Er mai brudio oedd prif amcan y cyfansoddiad hwn y mae ynddo adleisiau lawer o'r chwedl gysefin. Ystrydebol iawn ydynt gan amlaf eithr ymddengys Myrddin yn fwy urddasol ynddynt nag y gwna yng nghaneuon y Llyfr Du. Nis dirdynnir gan ofn ac ni chwyna gymaint am ei ddioddefiadau. Lle gynt y tybiai gael ei erlid yn barhaus gan Rydderch Hael, ef yn awr sy'n dweud pa bryd y bydd y brenin hwnnw farw. Ni chlywir am Wasawg na'r afallen na'r porchell, nid enwir Coed Celyddon, ac y mae

[1] Gw. *B.* i. 228.

[2] Dealler *gwassauc* fel enw priod ar ddyn. Cf. Loth, *R.C.* xxxviii. 300, '*Gwassawc* le garant de Rydderch'. Y ffurfiau yw: *B.B.C.* 50, *gwassauc*, *guassauc*; *Pen.* 3, 89, *waessawc*; *Pen.* 3, 99, *gwaessawc*; *R.P.* 5b21, *wassawc*; *Cy.* vii. 154, *wassawc*; Lhuyd, *Arch. Brit.* 263, *Uassog*. Am yr enw gw. Stokes, *U.S.* 278, dan *vasso-s*; Dottin, *R.C.* viii. 74; Holder, *A.C.S.*, dan *vassos*; *Lib. Land.* 276, 'et post illum *guassauc* ordinauit'. Cf. Watson, *History of the Celtic Place-Names of Scotland*, 178, ar yr enw *Gossock*.

[3] Yr oedd Rhydderch Hael yn berson hanesyddol diamheuol, gw. *C.Ll.H.* xxv, lle derbynnir y flwyddyn 600, O.C., fel cyfnod ei flodau.

agwedd Myrddin tuag at Wenddydd yn wahanol i'r hyn yw yn yr *Afallenau* a'r *Hoianau*.[1]

Brud yw'r *Wasgargerdd* bron i gyd. Honna fod yn broffwydoliaeth gan Fyrddin o'i fedd. Yn y llinellau cyntaf crybwylla ddyddiau ei ddewredd gynt pryd yr yfai win ymhlith arglwyddi mawrion, ac ar y diwedd cyfeiria at Wasawg a Gwenddydd a *gwyllion* y mynydd.

Yr unig grybwylliad o frwydr Arfderydd mewn ffynhonnell gwbl hanesyddol yw'r ddau air yn yr *Annales Cambriae*:

573: Bellum armterid.—*Cy.* ix. 155.

Ac nid yw adrannau cyntaf yr *Annales Cambriae*, hwythau, yn ffynhonnell hanesyddol o'r radd flaenaf.[2] Tybir cyfansoddi'r *Annales* tua chanol y ddegfed ganrif.[3] Mewn llawysgrif ohonynt a berthyn i'r 13eg ganrif ceir yr ychwanegiad a ganlyn ar ôl enwi brwydr Arfderydd:

> inter filios Elifer et Guendoleu filium Keidiau; in quo bello Guendoleu cecidit: Merlinus insanus effectus est.—*Ann. C., Rolls*, 5.

Fe sylwir mai *Merlinus*, ffurf Sieffre o Fynwy ar yr enw *Myrddin*, a ddefnyddia'r cofnodiad hwn. Er hynny, nid ffurf Sieffre ar y stori a geir. Sgrifennodd ef y *Vita Merlini* tua 1150.[4] Cyfrodedd o ffansïau ysgeifn ydyw a seiliwyd ar y traddodiadau Cymreig am Fyrddin[5] gan ychwanegu atynt ddeunydd o lawer cyfeiriad. Nid y lleiaf o'i ffynonellau oedd dychymyg Sieffre ei hun a dichon hefyd nad oedd ei gydnabyddiaeth ef â'r traddodiadau Cymreig am Fyrddin yn rhy helaeth. Ystumiodd y chwedl gan adrodd am ryfel rhwng Guennolous, brenin Sgotland, ar y naill law a Rodarchus, brenin Cumbria, a Peredurus, brenin y Venedoti, ar y llaw arall. Ymunodd Merlinus, brenin y Demetae, yn y rhyfel yn erbyn Guennolous. Lladdwyd tri brawd i Merlinus[6] yn yr ymladd. Bu ei ofid mor fawr fel y collodd ei bwyll a ffoi i'r goedwig i fyw:

Fit silvester homo, quasi silvis editus esset.—ll. 80.

Diau na allai Sieffre ddarganfod yn y traddodiadau Cymreig reswm digonol

[1] Rhaid ymatal rhag trafod beth oedd perthynas wreiddiol Myrddin â Gwenddydd. Y mae'n un o broblemau mwyaf dyrys chwedl Myrddin.

[2] Cf. Lloyd, *H.W.* 160: 'It is not until the age of Offa is reached that the entries begin to wear the aspect of a contemporary record kept in South Wales (St. David's), and it is from this point only that the chronicle takes the position of a historical authority of the first class.'

[3] Phillimore, *Cy.* ix. 144.

[4] Parry, *Vita Merlini*, 9; Faral, *Lég. Arth.* ii. 28.

[5] Gw. Chadwick, *Growth of Lit.* 123–32, ar y dadleuon ynghylch ffynonellau Sieffre.

[6] Dehonglodd rhai'r testun fel yn golygu tri brawd i Rodarchus, eithr gwanha hynny'r pwynt. Gw. Lot, *Études Sur Merlin*, *Annales de Bretagne*, 1900, 2; Parry, *V.M.* 32–3.

dros wallgofrwydd Myrddin ac mai dyna paham y dychmygodd am dri brawd iddo a chynnig eu marwolaeth hwy fel eglurhad.

Yn llenyddiaeth Iwerddon y ceir goleuni ar chwedl y milwr yn gwallgofi mewn brwydr ac yn ffoi i'r goedwig. Galwodd yr Athro Ifor Williams sylw at y tebygrwydd rhwng yr *Afallennau* a'r *Hoianau* a'r *Buile Suibhne* a olygwyd gan O'Keeffe ac a gyhoeddwyd gan yr *Irish Texts Society*, rhif xii.[1] Hanes bywyd Suibhne yn y goedwig wedi iddo wallgofi a geir yn y *Buile Suibhne*. Ceir dwy chwedl arall hefyd lle adroddir peth o hanes Suibhne, sef y *Fleadh Duin na N-Gedh* a'r *Cath Muighe Rath*,[2] a ffurfia'r rhain, gyda'r *Buile Suibhne*, gyfres o dair chwedl gysylltiedig. Yn y *Cath Muighe Rath* y mae disgrifiad cyflawn a manwl iawn o Suibhne'n colli ei bwyll, ac fe haedda fod yng nghyrraedd myfyrwyr Cymraeg a fo'n astudio canu Myrddin. Dyfynnaf o gyfieithiad Saesneg O'Donovan:

> With respect to Suibhne, the son of Colman Cuar, son of Cobhthach, king of Dal Araidhe, we shall treat of him for another while. Fits of giddiness came over him at the sight of the horrors, grimness, and rapidity of the Gaels; at the looks, brilliance, and irksomeness of the foreigners; at the rebounding furious shouts and bellowings of the various embattled tribes on both sides, rushing against and coming into collision with one another. Huge, flickering, horrible aerial phantoms rose up, so that they were in cursed, commingled crowds tormenting him; and in dense, rustling, clamorous, left-turning hordes, without ceasing; and in dismal, regular, aerial, storm-shrieking, hovering, fiend-like hosts constantly in motion, shrieking and howling as they hovered about them (i.e. about both armies) in every direction to cow and dismay cowards and soft youths, but to invigorate and mightily rouse champions and warriors; so that from the uproar of the battle, the frantic pranks of the demons, and the clashing of arms, the sound of the heavy blows reverberating on the points of heroic spears and keen edges of swords, and the warlike borders of broad shields, the noble hero Suibhne was filled and intoxicated with tremor, horror, panic, dismay, fickleness, unsteadiness, fear, flightiness, giddiness, terror, and imbecility; so that there was not a joint of a member of him from foot to head which was not converted into a confused, shaking mass, from the effect of fear, and the panic of dismay. His feet trembled, as if incessantly shaken by the force of a stream; his arms and various-edged weapons fell from him, the power of his hands having been enfeebled and relaxed around them, and rendered incapable of holding them. The inlets of hearing were expanded and quickened by the horrors of lunacy; the vigour of his brain in the cavities of his head was destroyed by the clamour of the conflict; his heart shrunk within him with the panic of dismay; his speech became faultering from the giddiness of imbecility; his very soul fluttered

[1] *B.* i. 228.

[2] *The Banquet of Dun na N-Gedh and The Battle of Magh Rath*, . . . John O'Donovan. Dublin, 1842.

> with hallucination, and with many and various phantasms, for that (i.e. the soul) was the root and true basis of fear itself. He might be compared on this occasion to a salmon in a weir, or to a bird after being caught in the strait prison of a crib. But the person to whom these horrid phantasms and dire symptoms of flight and fleeing presented themselves, had never before been a coward, or a lunatic void of valour; but he was thus confounded because he had been cursed by St. Ronan, and denounced by the great saints of Erin, because he had violated their guarantee, and slain an ecclesiastical student of their people over the consecrated trench, that is, a pure clear-bottomed spring over which the shrine and communion of the Lord was placed for the nobles and arch-chieftains of Erin, and for all the people in general, before the commencement of the battle.[1]

Yna disgrifir fel y neidiodd Suibhne i'r awyr a disgyn ar fogel tarian y milwr agosaf ato. Neidiodd drachefn ar grib helm milwr arall, ac yna'r trydydd tro i ben coeden a oedd gerllaw. O'r diwedd ffoes i'r goedwig yn ŵr gwallgof.

Crybwyllir digwyddiadau cyffelyb mewn ffynonellau Gwyddelig eraill. Nodweddid *gwyllon* Iwerddon gan eu gallu i ehedeg ac yn y croniclau gelwid hwy'n *uolatiles*.[2] Yn y chwedl *Cath Finntrága*[3] disgrifir ymladdwr yn colli ei bwyll mewn brwydr, ac yno nid oes sôn am felltith unrhyw sant arno. Yn ôl y gwaith Llychlyneg *Kongs Skuggsjo* neu *Speculum Regale* llwfrdra a achosai wallgofrwydd.[4]

Ffurfiau ar yr un chwedl yw'r hanesion Ysgotaidd am Lailoken. Ceir yr hynaf ohonynt, o ran oed y llawysgrif, ym *Muchedd Cyndeyrn*[5] a gyfansoddwyd gan Jocelinus o Furness yn y ddeuddegfed ganrif, a lle rhoir y sillafiad *Laloecen*. Yn y bennod olaf dywedir bod ynfytyn yn byw yn llys Rederech, sef Rhydderch Hael:

> In curia ejus quidam homo fatuus, vocabulo Laloecen,[6] degebat, qui victualium et vestitus necessaria, ex Regis munificentia, perciebat. Solent enim optimates terre, filii regni, vanitati dediti, homines hujusmodi secum retinere; qui et ipsos dominos, et familiam, verbis et gestibus fatuis possunt in jocos et cachinnos commovere. Hic homo post depositionem Sancti Kentegerni gravissimis lamentis se afficiebat; nec aliquam consolationem ab aliquo accipere valebat.
>
> Qui cum perquireretur cur tam inconsolabiliter lugeret, respondit

[1] O'Donovan, op. cit. 231–3.

[2] E.e. *Tigernach*, *R.C.* xvii. 229.

[3] Kuno Meyer, *The Cath Finntrága or Battle of Ventry*, 18.

[4] *Folklore*, v. 311; *Ériu*, iv. 11.

[5] Gol. gan Forbes, *Lives of S. Ninian and S. Kentigern*; *Historians of Scotland*, v; 1874. Cymer Forbes ei destun o lawysgrif *Marsh, v. 3. 4. 16* (yn llyfrgell yr Archesgob Marsh, Dulyn) gan roi amrywiadau o *Bibl. Cott. Vitellius. C, viii. ff. 148–95* (Amgueddfa Brydeinig; 13eg ganrif, neu efallai, 12fed). Gw. rhagymadrodd Forbes, *Kent.* lxiv.

[6] *Laloicen* yn llsgr. yr Amgueddfa Brydeinig.

> Regem Rederech dominum suum, et quemdam de primoribus terre nomine Morthec, non posse post mortem Sancti episcopi diutius in hac vita morari, sed illo anno presenti in fata concessuros. Quod dictum fatui quum non fatue, sed pocius prophetice, prolatum fuerit, mors prefatorum eodem anno subsecuta evidenter comprobavit. . . . Eodem ergo anno quo pontifex sanctus decessit Kentegernus, et Rex, ac princeps, predicti obierunt; et in Glasgu sepulti sunt.—*Kent.* 241.

At y chwedl hon y cyfeiria'r Athro Ifor Williams yn *C.Ll.H.* 156, gan wrthod ei chysylltu â chwedl Myrddin, 'Nid yn llys Rhydderch yr oedd Myrddin *yn ei wylltineb*, ond yng Nghoed Celyddon; nid ynfytyn ydoedd hyd frwydr Arfderydd.' Y mae, fodd bynnag, ddwy chwedl arall am yr ynfytyn hwn. Cyn dyfynnu ohonynt rhaid egluro cysylltiadau'r llawysgrif lle ceir hwy.

Yn ychwanegol at waith Jocelinus ceir darn o fuchedd arall i Gyndeyrn. Ni chadwyd ond yr wyth pennod gyntaf ohoni, mewn llawysgrif o ddechrau'r bymthegfed ganrif,[1] *Cott. MSS. Titus A. xix. f. 76–80.* Argraffwyd y penodau hyn gan Forbes, *Kent.* 243–52. Tybir eu cyfansoddi bum mlynedd ar hugain o flaen buchedd Jocelinus,[2] a rhoddant hanes geni Cyndeyrn ac ychydig ddigwyddiadau diweddarach. Yn y rhagymadrodd i'r fuchedd anghyflawn hon dywed ei hawdur mai o ddwy ffynhonnell y cafodd ddefnyddiau, sef llyfryn ysgrifenedig a gwybodaeth oddi ar lafar:

> . . . de materia in virtutum ejus codicello reperta et vivâ voce fidelium michi relata. . . . *Kent.* 243–4.

Dywed Jocelinus yn ei ragymadrodd i'w fuchedd yntau ei fod wedi defnyddio dwy ffynhonnell. Un oedd y fuchedd a oedd ar y pryd yn yr Eglwys yn Glasgow. Condemnia hi'n llym oherwydd ei harddull ac oherwydd y stori a edrydd am enedigaeth Cyndeyrn. Tybir mai hon oedd y fuchedd sydd bellach yn anghyflawn.[3] Yna crybwylla Jocelinus y ffynhonnell arall:

> Codiculum autem alium, stilo Scottico[4] dictatum, reperi, per totum soloecismis scatentem; diffusius tamen vitam et actus Sancti Pontificis continentem.—*Kent.* 160.

Y mae'n dra thebyg mai cyfeiriad sydd yma at y llyfryn a ddefnyddiwyd bum mlynedd ar hugain ynghynt gan awdur y fuchedd anghyflawn.[5]

Yn y llawysgrif lle cadwyd y fuchedd anghyflawn y ceir hefyd y ddwy

[1] Ward, *Cat. of Romances*, i. 290, 'paper xvth cent.'; Forbes, *Kent.* lxiii.

[2] Forbes, *Kent.* lxiii–lxiv.

[3] Forbes, *Kent.* 314.

[4] 'A *Latin* Life, full of Scottish idioms,' Ward, *Romania*, xxii. 507; 'a little volume written in the Scottish-Irish style of Latin,' Jackson, *Yorkshire Society for Celtic Studies*, 1934–5, 13.

[5] Ward, *Rom.* xxii. 506.

chwedl arall am yr ynfytyn Laloecen neu Lailoken. Gallwn eu galw'n *Lailoken a Chyndeyrn* a *Lailoken a Meldred*. Ceir hwy yn union o flaen y fuchedd anghyflawn yn y llawysgrif, sef ar ff. 74–5b. *Lailoken* yw'r ffurf ar enw'r ynfytyn yn gyson ynddynt. Argraffwyd hwy'n gyflawn gan Ward am y tro cyntaf, a'r unig dro, yn y cylchgrawn *Romania*, xxii. 514–25.

Yr oedd rhan o gynnwys un ohonynt yn hysbys cyn i Ward eu hargraffu. Yn 1447 cwplaodd Walter Bower y gwaith a elwir y *Scotichronicon*.[1] Parhad ydoedd o waith anorffenedig Fordun, y *Chronica Gentis Scotorum*,[2] a adawyd ar ei ganol pan fu farw'r awdur tua 1387. Ymhlith yr ychwanegiadau ceir cwtogiad o chwedl *Lailoken a Chyndeyrn*. Dull Bower o gwtogi oedd gadael canol y chwedl allan a chydio'r dechrau a'r diwedd ynghyd heb boeni dim am rediad y synnwyr. Newidiodd ychydig hefyd ar ambell ymadrodd. Cyhoeddwyd ei destun ef gan Ward ochr yn ochr â'r testun cyflawn. Cwtogiad y *Scotichronicon* a ddefnyddiodd pob beirniad a fu'n trafod y chwedl o flaen Ward.[3]

Awgryma Ward, *Rom.* xxii. 513, y gallai'r copi o *Lailoken a Chyndeyrn* a geir yn *Titus A. xix* fod wedi ei sgrifennu'n arbennig ar gyfer Bower pan weithiai ar y *Scotichronicon*. Cred Ward mai pennod allan o'r fuchedd anghyflawn i Gyndeyrn yw'r chwedl hon, er ei bod wedi ei sgrifennu mewn llawysgrifen dipyn yn hŷn na llawysgrifen y fuchedd. Gwrthwynebir ei farn ar hyn gan Faral, *Lég. Arth.* ii. 355, ar sail y gwahaniaeth yn oed y ddwy lawysgrifen a'r ffaith mai o flaen y fuchedd y ceir y chwedl yn *Titus A. xix*.

Bellach gallwn fwrw golwg ar y ddwy chwedl. *Lailoken a Chyndeyrn*, y gyntaf a'r hwyaf, yw'r bwysicaf i'n pwrpas ni. Sonia am Gyndeyrn yn gweddïo mewn man unig pryd yr aflonyddwyd ar ei fyfyrdodau yn ddisymwth gan ŵr gwyllt a thruenus ei olwg:

> Eo quidem in tempore quo beatus Kentegernus heremi deserta frequentare solebat. contigit die quadam illo in solitudinis arbusto

[1] *Joannis de Fordun Scotichronicon, cum Supplementis et Continuatione Walteri Boweri . . . editum . . .* Walteri Goodall; Edinburgh, 1747–59.

[2] Arg. a gol. gan Skene, *Historians of Scotland*, i; iv.

[3] Scott, *Minstrelsy of the Scottish Border*, iv. 141–7; Skene, *Proc. Ant. Soc. of Scotland*, vi. 91—dyfynnir gan Forbes, *Kent.* 360; Price, *Hanes Cymru*, 208–9; *Lit. Remains*, i. 143; Stephens, *Lit. Kymry*, 220. Y mae gan Villemarqué, *Myrdhinn ou L'Enchanteur Merlin*, 68, drafodaeth ar Gyndeyrn ac â ymlaen i adrodd chwedl Lailoken. Eithr testun y *Scotichronicon* a gyfieithir ac a grynhoir ganddo, er iddo gyfeirio at '*Tit. A. 19*'. *Merlin* y geilw'r ynfytyn bob tro, nid *Lailoken*. Dywed Stuart Glennie, *Arthurian Localities*, 68–70, mai dyfyniadau Villemarqué o'r *Scotichronicon* a'i cymhellodd yn 1866 i chwilio am fangre Arfderydd yn ardal Liddesdale.

solicite orante. vt quidam demens nudus et hirsutus et ab omni bono destitutus. quasi quidam toruum furiale transitum faceret secus eum qui Lailoken vocabatur.[1] quem quidam dicunt fuisse Merlynum. qui erat Britonibus quasi propheta singularis. sed nescitur.

Gofynnodd Cyndeyrn iddo pwy ydoedd:

Quem cum vidisset sanctus Kentegernus. fertur eum in dicendo taliter conuenisse. Adiuro te qualiscunque es creatura dei per patrem et filium et spiritum sanctum. si ex parte dei es et in deum credis, vt mecum loquaris. exprimens quis es et cur in hac solitudine soliuagus siluestribus comitaris bestijs.

Ei ateb yw'r adran bwysicaf yn y chwedl i'n pwrpas ni:

Ego sum christianus licet tanti nominis reus.[2] in hac solitudine dira paciens fata que pro peccatis meis mihi sunt cum feris predestinata. quoniam non sum dignus inter homines mea punire peccamina. Eram enim cedis omnium causa interemptorum qui interfecti sunt in bello. cunctis in hac patria constitutis satis noto. quod erat in campo qui est inter Lidel et Carwannok.[3] in quo etiam prelio, celum super me dehiscere cepit. Et audiui quasi fragorem maximum. vocem de celo mihi dicentem. Lailochen. Lailochen.[4] quia tu solus omnium istorum interfectorum reus es sanguinis, tu solus cunctorum scelera punies. Angelis enim Sathane traditus vsque in diem mortis tue. conuersacionem habebis inter bestias siluestres. Cum autem ad vocem quam audiui meum direxi intuitum, vidi splendorem nimium quem natura humana sustinere non potuit. Vidi etiam innumerabiles phalanges exercitus in aera[5] fulguri similes chorusco. lanceas igneas. et tela scintillancia in manibus tenentes, que crudelissime in me vibrabant. Vnde extra meipsum conuersum, spiritus malignus me arripuit. ferisque siluestribus sicut ipse contemplaris predestinauit.

Wedi dweud hyn llamodd Lailoken ymaith:

Et hijs dictis prosiluit in loco[6] inde nemorum infrequentia. feris duntaxat ac auibus nota.

Tosturiodd Cyndeyrn yn fawr wrtho:

De cuius miseria Kentegernus beatus valde compassus, procidit in faciem suam super terram dicens: Domine Jhesu, Hic miserorum miserrimus hominum. quomodo in hac squalenti degit solitudine inter bestias vt bestia. nudus et profugus et herbarum tantum pabulo pastus. Sete et pili sunt feris ac bestijs tegmina naturalia herbarumque virecta. radices et folia, propria cibaria. Hic frater noster formam. nuditatem. carnem sanguinem et fragilitatem. sicut vnus habens ex

[1] Yn y *Scotichronicon* ceir: 'qui vulgo Lailoken vocabatur', a gadewir gweddill y paragraff allan.

[2] *Scot.*, 'Ego sum Christianus licet tanti nominis reus, olim Vortigerni vates, Merlinus vocitatus.'

[3] *Scot.*, 'quod erat in campo inter Lidel et Carwanolow situato.'

[4] *Scot.*, 'Lailoken, Lailoken.'

[5] *Scot.*, 'aere'.

[6] *Scot.*, 'loca'.

> nobis,[1] omnibus caret quibus humana indiget natura. preter duntaxat aerem communem. Quomodo igitur pre fame et algore et inediarum vniuersitate inter bestias viuit siluestres?

Dyfnhaodd tosturi Cyndeyrn tuag at y truan:

> Fleuit igitur pietatis lacrimis genas profusus pius presul Kentegernus, solito arcius. pro dei amore. solitudinari se tradens discipline. Opitulabatur etiam domino precibus obnixis. pro illo siluestri homine. misero immundo et energuminoso, vt calamitates et erumpne quas paciebatur hic in corpore. sue subsisterent anime refrigerium in futuro.

Aeth yn arferiad gan Lailoken ddyfod i eistedd ar graig uwchben yr afon Mellodonor[2] gan weiddi a phroffwydo ac aflonyddu ar Gyndeyrn a'i ddisgyblion. Ni byddai byth yn proffwydo'r un peth ddwy waith a chan hynny ni choeliai neb mohono, eithr cedwid ambell un o'i ddywediadau a'u sgrifennu i lawr. Bore'r diwrnod yr oedd i farw daeth at y graig fel arfer dan weiddi tra gweinyddai Cyndeyrn yr Offeren. Gofynnodd gan Gyndeyrn a gâi ef gymundeb corff Crist cyn marw, eithr ystyriai'r sant fod ei ymarweddiad yn amharchus ac anfonodd un o'i ddisgyblion ato i ofyn iddo ddistewi. Atebodd Lailoken y byddai farw y dydd hwnnw a gofynnodd i'r disgybl erfyn ar Gyndeyrn roi'r cymundeb iddo cyn i hynny ddigwydd. Nid oedd Cyndeyrn yn fodlon ac anfonodd ato i ofyn pa fodd y byddai farw. Atebodd Lailoken y lleddid ef y dydd hwnnw trwy ei labyddio â cherrig a ffyn. Er mwyn rhoi prawf ar ei eirwiredd anfonodd Cyndeyrn yr un cwestiwn ato drachefn a chafodd yr ateb y trywenid ef i farwolaeth. Anfonodd ato'r trydydd tro a chafodd ateb gwahanol eto, sef y byddai farw trwy foddi yn y tonnau. Digiodd Cyndeyrn wrtho am ymddangos mor gelwyddog eithr o'r diwedd trugarhaodd wrtho a rhoi iddo'r sagrafen a geisiai.

Ar ôl cymryd y sagrafen dywedodd Lailoken wrth y sant os byddai farw y dydd hwnnw y dilynid ef cyn pen y flwyddyn gan y blaenaf o frenhinoedd Prydain, y santeiddiaf o'r esgobion a'r clodforusaf o'r uchelwyr:

> Regum Britannie prestantissimus. Episcoporum sanctissimus. Comitum nobilissimus, in hoc anno me sequentur.

Ceryddodd Cyndeyrn ef am lefaru yn y fath fodd a llamodd Lailoken ymaith:

> prosiluit inde velut capreolus de laqueo venantis ereptus. solitudinis petens letus frutecta.

[1] *Scot.*, 'sicut unus nostrûm habens, nuditate et fame morietur'. Yma y talfyrrodd Bower y testun gan adael canol y chwedl allan.

[2] Molendinar heddiw; gw. Watson, op. cit. 386; *Rom.* xxii. 516.

Cyn diwedd y dydd hwnnw gwiriwyd ei broffwydoliaeth. Ymosododd bugeiliaid y brenin Meldred arno, llabyddiasant a churasant ef hyd at farw, a bwriwyd ef i ddyfroedd afon Tweed lle trywanwyd ei gorff gan bren a adawsid yn y dŵr. Felly y bu farw farwolaeth drifflyg:

> contigit vt eodem die a quibusdam regis Meldredi pastoribus vsque ad mortem lapidatus ac fustigatus. casum faceret in mortis articulo. vltra oram Trauedis[1] fluminis preruptam. prope oppidum Dunmeller.[2] super sudem acutissimam. que in aliqua piscaria erat inserta. et transfixus per medium corpus. inclinato capite in stangno. spiritum sicut prophetauerat. domino transmisit.[3]

Dyna grynhoi chwedl *Lailoken a Chyndeyrn*. Y mae *Lailoken a Meldred* yn fyrrach, ac ni raid i ni aros fawr gyda hi. Ni chrybwyllir hi yn y *Scotichronicon* o gwbl.

Edrydd fod y brenin Meldred yn dal Lailoken yn garcharor yn ei balas yn nhref Dunmeller. Mynnai'r brenin gael ganddo siarad, eithr nid yngan-odd air ac ni fwytaodd ddim am dri diwrnod. Yna gwelodd y frenhines yn cerdded i mewn i'r palas â deilen ar ei phen a Meldred yn gafael yn y ddeilen a'i malu'n ddarnau mân. Chwarddodd Lailoken, ac ar y cychwyn ni ellid ei ddarbwyllo i egluro paham y chwarddasai. Cynigiodd Meldred ei ryddid iddo pes eglurai. Dywedodd Lailoken y byddai farw farwolaeth drifflyg ymhen ychydig ddyddiau, a gofynnodd am gael ei gladdu yn nhref Dunmeller ger y fan lle rhed yr afonydd Passales[4] a Tweed ynghyd. Ychwanegodd broffwydoliaeth dywyll y tybia rhai[5] mai at Gadwaladr y cyfeiria. Rhoddwyd sicrwydd iddo y cleddid ef yn y fan a ddymunai, tynnwyd ei rwymau oddi amdano, ac aeth yntau yn ei flaen i egluro paham y chwarddasai. Bu'r frenhines, eb ef, yn yr ardd yn godinebu, a'r ddeilen a lynodd wrth wisg ei phen a'i bradychodd. Yna'n ddisyfyd aeth allan o'r palas a'r dref a chyrchu'r unigeddau y dyheai ei ysbryd amdanynt.

Taerai'r frenhines ei bod yn ddieuog a mynnai y dylid dal Lailoken a'i gosbi am ei henllibio, eithr nid oedd Meldred yn dawel ei feddwl ynghylch ei diniweidrwydd. Cynlluniodd hithau ddial ar Lailoken ac ymhen rhai blynyddoedd daliwyd ef, yn union wedi iddo gymryd cymun gan Gyndeyrn Sant, gan nifer o fugeiliaid a weithredai dan ei gorchmynion. Lladdasant

[1] *Scot.*, 'Tuedae'.

[2] Drumelzier heddiw; gw. *Rom.* xxii. 521, 525; Watson, op. cit. 421.

[3] Yn dilyn ceir yn y *Scotichronicon*: 'Unde quidam; *Sudeque perfossus, lapide percussus, et undâ: Haec tria Merlinum fertur inire necem.*' Ceir y geiriau hyn, bron yr un fath, fel cwpled ar derfyn yr ail chwedl yn *Titus A. xix.*

[4] Pausayl heddiw; gw. *Rom.* xxii. 523.

[5] Ward, *Rom.* xxii. 525; Jackson, op. cit. 14.

ef yn y dull a broffwydasai, a chladdwyd ef yn Dunmeller yn ôl ei ddymuniad. Terfyna'r hanes gyda'r cwpled:

> Sude perfossus. lapidem perpessus. et vndam;
> Merlinus triplicem fertur inisse necem.

Yn ôl Ward[1] math o atodiad yw'r stori hon i chwedl *Lailoken a Chyndeyrn,* ei hamcan oedd egluro paham y lladdwyd Lailoken gan fugeiliaid Meldred, ac awdur arall, o bosibl, a'i cyfansoddodd. Geilw Ward sylw hefyd at yr hyn a eilw'n 'jingles' ynddi, sef odlau yn y brawddegau megis *perplexum . . . nexum, mesticia . . . tristicia,* ac ychwanega: 'Perhaps the writer was, half unconsciously, imitating the form in which he had heard the story told in Celtic.'—*Rom.* xxii. 523. Cred Chadwick[2] hefyd na pherthyn y ddwy chwedl i'r un gwaith, ac awgryma'n gynnil iawn nad oes dim yn arddull *Lailoken a Meldred* yn erbyn credu mai ei ffynhonnell yw'r fuchedd goll i Gyndeyrn a ddisgrifiwyd gan Jocelinus fel 'Codiculum . . . stilo Scottico dictatum'. Os yw hyn yn gywir gellir awgrymu ymhellach fod y fuchedd goll honno ar ffurf fydryddol.[3]

Tybiaf y byddai braidd yn anodd cysoni holl awgrymiadau Ward a Chadwick â'i gilydd. Gwelsom fod Ward yn credu mai pennod o'r fuchedd anghyflawn a geir yn *Titus A. xix* yw *Lailoken a Chyndeyrn.* Un o ffynonellau'r fuchedd honno oedd y deunydd a gafwyd 'in virtutum ejus *codicello*', ac os yw'n gywir mai cyfeiriad sydd yma at y '*Codiculum* . . . stilo Scottico dictatum', yna, os dilynwn Chadwick, rhaid i ni gredu bod *Lailoken a Meldred* i'w chael mewn gwaith a oedd yn ffynhonnell i'r fuchedd anghyflawn. Gan hynny, os cyfansoddwyd *Lailoken a Chyndeyrn* ar gyfer y fuchedd anghyflawn y mae *Lailoken a Meldred* yn hŷn na hi. Os atodiad yw'r ail chwedl i'r gyntaf rhaid bod *Lailoken a Chyndeyrn* wedi ei chodi i'r fuchedd anghyflawn o ryw ffynhonnell hŷn na'r 'codiculus'.

Pa fodd bynnag, seilio damcaniaeth ar ddamcaniaeth arall yw hyn. Un peth sydd sicr, sef mai'r un gŵr yw *Lailoken* y ddwy chwedl hyn a *Laloecen* y *Vita Kentegerni.* Yr un enw sydd arnynt, ynfydion ydynt fel ei gilydd, gall y naill a'r llall broffwydo a cheir yr un broffwydoliaeth, i bob pwrpas, gan y ddau. Saif y naill fel y llall, hefyd, mewn perthynas arbennig â Chyndeyrn.

Ys gwir bod gwahaniaethau. Clerwr mewn llys yw *Laloecen.* Gŵr gwyllt o'r goedwig yw *Lailoken,* ac o'i anfodd y mae yn llys Meldred. A chan fod ein testunau o fuchedd Cyndeyrn gan Jocelinus yn hŷn na *Titus A. xix* fe ddichon yr ymddengys y gwahaniaeth hwn yn bwysig ar yr

[1] *Rom.* xxii. 513.
[2] *Growth of Lit.,* 110.
[3] Cf. Baxter a Johnson, *Med. Lat. Word-List,* 131; '*dicto* 1245, — *tor* (dep.) c. 1146, "to write poetry".'

wyneb. Os derbyniwn ddamcaniaeth Ward mai rhan o'r fuchedd anghyflawn a ddefnyddiwyd fel ffynhonnell gan Jocelinus yw *Lailoken a Chyndeyrn* fe ddiflanna'r anhawster. Sut bynnag, ffôl yw credu na all yr un stori fod yn hŷn na'r llawysgrif hynaf lle ceir hi, a gellir esbonio'r gwahaniaethau rhwng *Laloecen* a *Lailoken* trwy dybio naill ai fod Jocelinus wedi ystumio'r chwedl i bwrpas y fuchedd a sgrifennai, neu fod amryfal ffurfiau arni yn bod yn ei oes ef. Awgrym o'r ail bosibilrwydd yw mai yn llys Rederech yr oedd *Laloecen*, tra mai Meldred oedd y brenin a wnaethai garcharor o *Lailoken*.

Y mae yr un mor eglur mai Lailoken yw Myrddin y caneuon Cymraeg. Gwŷr gwyllt a thruenus yn byw yn y goedwig yw'r naill fel y llall. Collodd y ddau eu pwyll mewn brwydr. Dywedir yn bendant yn hanes Lailoken mai ef a achosodd y frwydr honno, a lled-awgrymir rhywbeth tebyg yng nghaneuon y Llyfr Du am Fyrddin. Gall Lailoken a Myrddin broffwydo, lleolir hwy yn Sgotland yn yr un cyfnod, sef oes Rhydderch Hael a Chyndeyrn, amgylchir y ddau gan awyrgylch o erledigaeth, a cheir ebychiadau defosiynol a galw ar Dduw am drugaredd yng ngenau'r naill fel ei gilydd. Yn y *Cyfoesi* proffwyda Myrddin farwolaeth Rhydderch Hael. Proffwyda Laloecen yr un peth yn y *Vita Kentegerni*, ac nid oes ddadl nad at Rydderch y cyfeiria'r geiriau 'Regum Britannie prestantissimus' yn *Lailoken a Chyndeyrn*.

Y mae gwahaniaethau wrth gwrs. Hyd y gwyddom ni lofruddir Myrddin, er y deallwn ar ddiwedd y *Cyfoesi* ei fod i farw. Yn y chwedlau am Lailoken ni chlywn am Wenddydd na Gwasawg na Gwenddolau, ni chyferchir na'r afallen na'r porchell, a Meldred yw'r erlidiwr, nid Rhydderch Hael. Y mae agwedd Myrddin tuag at Rydderch yn y caneuon yn gwbl wahanol i agwedd Laloecen tuag at Rederech yn y *Vita Kentegerni*. Ni chymer Rhydderch unrhyw ran yn y ddwy chwedl am Lailoken yn *Titus A. xix*.

Y mae dau wahaniaeth arall pur hynod. Un yw na chlywn am Gyndeyrn yn y caneuon Cymraeg. Y mae hyn yn drawiadol gan y ceir yn y ffurf Wyddeleg ar y chwedl hefyd sant, sef Moling, a gyfetyb, fwy neu lai, i Gyndeyrn yn y ffurfiau Sgotaidd. Gydag ef y treulia Suibhne ei ddyddiau olaf. Lleddir Suibhne gan heusor Moling, a chyn iddo farw rhydd Moling y sagrafen olaf iddo.[1]

Y gwahaniaeth arall[2] yw na chrybwylla'r caneuon Cymraeg fod Myrddin

[1] Gw. *Buile Suibhne*, 141, &c.; cf. Stokes, *Birth and Life of St. Moling*, *R.C.* xxvii. 303; O'Grady, *Silva Gadelica*, ii. 169–70. Yn *Silva Gadelica*, ii. 85, adroddir fel y cafodd Beg Mac De gymun gan Columba cyn marw, wedi iddo broffwydo ei angau ei hun.

[2] Y mae chwedlau'r ddeilen a'r farwolaeth driflyg hefyd yn elfennau na cheir mohonynt yn y caneuon Cymraeg. Eithr y mae'n bur sicr na pherthynai'r storïau hyn i ffurf wreidd-

wedi gweld gweledigaeth yn yr awyr ym mrwydr Arfderydd, tra rhydd chwedl *Lailoken a Chyndeyrn* ddisgrifiad byw iawn o'r weledigaeth a welodd Lailoken. Dwg ar gof i ni, efallai, y drychiolaethau a welodd Suibhne ym mrwydr Magh Rath yn ôl y *Cath Muighe Rath*, eithr nid yr un peth o gwbl oedd y rheini. Pa fodd bynnag, fe geir yng ngweithiau Gerallt Gymro aml gyfeiriad at Fyrddin ac yn eu plith ceir y paragraff a ganlyn:

> Erant enim Merlini duo; iste qui et Ambrosius dictus est . . . alter vero de Albania oriundus, qui et Celidonius dictus est, a Celidonia silva in qua prophetizavit, et Silvester, quia cum inter acies bellicas constitutus monstrum horribile nimis in aera suspiciendo prospiceret, dementire coepit, et ad silvam transfugiendo silvestrem usque ad obitum vitam perduxit. Hic autem Merlinus tempore Arthuri fuit, et longe plenius et apertius quam alter prophetasse perhibetur.[1]

Gweithiau Sieffre o Fynwy yw ffynhonnell rhan helaeth o gyfeiriadau Gerallt Gymro at Fyrddin,[2] eithr nid yw'r *Vita Merlini* yn sôn am weledigaeth yn yr awyr. Gall fod Gerallt wedi cael stori'r weledigaeth o Sgotland, er nad oes dim manylion yn y paragraff uchod y gellir eu cydio'n bendant wrth y disgrifiad llawnach a geir yn *Lailoken a Chyndeyrn*. Dichon ar y llaw arall mai traddodiadau yng Nghymru oedd ei ffynhonnell, traddodiadau llafar neu ysgrifenedig na chorfforwyd hwy yn y caneuon a gadwyd yn y llawysgrifau. Os tybiwn hynny y mae'r paragraff a ddyfynnwyd yn ddolen gydiol werthfawr rhwng Myrddin a Lailoken.

Wedi cydnabod pob gwahaniaeth na phwysleisiwn hwy'n ormodol. Tystiolaeth ydynt fod canghennau Cymreig ac Ysgotaidd y chwedl wedi datblygu'n annibynnol ar ei gilydd. Ni phrofant nad yr un ar y cychwyn oedd Myrddin a Lailoken. Os erys unrhyw amheuaeth am hynny dylai ystyriaeth o'r enw *Arfderydd*[3] ei chwalu'n derfynol. Tybiodd rhai mai *Airdrie*[4] ydyw, eithr y ffurf Aeleg *Ardruigh*[5] yw hwnnw. Profodd

iol chwedl Myrddin. Ceir hwy mewn llawer llenyddiaeth. Gw. Chadwick, *Growth of Lit.* 114, &c.; Bruce, *Evol. of Arth. Romance*, i. 142; Parry, *Triple Death in the Vita Merlini*, *Speculum*, v. 2; Faral, *Lég. Arth.* ii. 365; Reeves, *Vita S. Columbae . . . Adamnano*, 136; *Silva Gadelica*, ii. 74, 85, 86; Paton, *P.M.L.A.A.* xxii. 241.

[1] *Itin. Kambriae, II.* viii, *Rolls*, 133. Cf. mydryddiad Ranulph Higden o hyn, *Polychronicon*, *Rolls*, i. 420.

[2] Sieffre o Fynwy yn ei *Historia Regum Britanniae* a'i *Vita Merlini* yw ffynhonnell y syniad am ddau Fyrddin. Ymddengys mai Gerallt Gymro oedd y cyntaf i'w ledaenu. Gw. Parry, *Vita Merlini*, 16; Chadwick, *Growth of Lit.* 130–1; a'r dyfyniadau yn dangos ei dwf a gasglwyd gan Mead, *Merlin*, *E.E.T.S.* ii, clxxxv–cciv.

[3] Y ffurfiau yw *Cy.* ix. 155, *armterid*; *Ann. C.*, *Rolls*, 5, *Erderit*, *Arderit*; *B.B.C.* 4, 50, 62, *arywderit*; *R.M.* 301, *arderyd*; *R.P.*, 1b10, &c., *arderyd*. Am elfennau'r enw gw. *C.Ll.H.* 161.

[4] Chalmers, *Caledonia*, i. 246; Stephens, *Gododin*, 72; Anwyl, *Celt. Rev.* 1907–8, 250.

[5] Watson, op. cit. 202.

Skene[1] yn bur ddigamsyniol mai *Arthuret*, yn Cumberland, yw *Arfderydd*. Yn rhyfedd iawn cychwynnodd ar ei ymresymiad trwy wneuthur dau gamgymeriad. Un oedd darllen y ffurf Gymraeg fel *Ardderyd*,[2] 'double *d* in Welsh', eb ef, 'being equivalent to *th*'. Dangosodd Lloyd, *H.W.* 166, nad oedd hynny'n angenrheidiol gan mai *Arturet* oedd y ffurf yn y drydedd ganrif ar ddeg yn y *Taxatio Ecclesiastica*, 319. Y camgymeriad arall oedd cyfieithu'r triawd:

> Teir Gosgord Adwy Ynys Prydein . . . a Gosgord Dryan mab Nud.—*F.A.B.* ii. 462,[3]

fel 'the three retinues of the passes'. Ar sail y cyfieithiad hwn aeth i chwilio am fangre'r frwydr,—'we ought, in the first place', eb ef, 'to look for it in one of the great passes into the country'. Yna'n ffodus iawn trawodd ar hanes Lailoken yn y *Scotichronicon*, gwelodd debyced yw i'r traddodiadau am Fyrddin yn y caneuon Cymraeg, a chyfeiriwyd ei ymchwiliadau ganddo at fan a gydweddai i'r dim â'i ragdybiaethau daearyddol. Yn y *Scotichronicon* lleolir y frwydr

> in bello . . . quod erat in campo inter Lidel et Carwanolow situato.

*Liddel* yw'r afon a red trwy *Liddesdale*, gan uno ag Esk tua naw milltir i'r gogledd o Gaerliwelydd. Ymhlith enwau lleoedd yr ardal darganfu Skene:

> . . . among the baronies which formed part of the great possessions of Ranulph de Meschines, in the reign of Henry the First . . . the Barony of *Lyddale* . . . it consisted of the lands of Esk, *Arthuret*, Stubhill, *Carwindlaw* . . ., &c.

Casglodd mai *Arthuret* yw *Arfderydd* ac mai *Carwindlaw* yw *Carwanolow*, sef *Caer Wenddolau*. Yn *Celtic Scotland*, i. 157, rhydd ymhellach y ffurf *Carwhinelow* a disgrifia'r fangre a'r 'magnificent hill-fort called the Moat of Liddel'. Yno, eb ef, 'this great battle was fought, the centre of a group of Welsh traditions'.

Derbyniwyd y lleoliadau hyn yn bur gyffredinol.[4] Dyma sy'n bwysig:

[1] *Proc. Ant. Soc. of Scotland*, vi. 91; dyfynnir gan Forbes, *Kent.* 360; Skene, *Chron. Picts and Scots*, xciii; *F.A.B.* i. 65.

[2] Nid Skene oedd y cyntaf i ddefnyddio'r ffurf *Ardderyd*. Yn *Arch. Brit.* 233, rhydd Lhuyd, '*Ardderyd*, A country in Scotland so called. Arderydh'. Defnyddia Rhys *Ardderyd* yn *Celtic Britain*, 143.

[3] Cf. *M.A.* 390, 'Teir gosgordd adwy Y. P. . . . gosgordd Drywon mab Nudd yn Rodwyd Arderyt'; ibid. 396, 'Teir gosgord aduyn'; *R.M.* 302, 'Teir gosgerd advwyn . . . gosgord dreon lew yn rotwyd arderys'; *Cy.* vii. 126, 'Teir gosgord adwvyn.' Tybiai Skene mai *adwy* oedd y gair, eithr *addfwyn*, 'hardd', ydyw—gw. *C.LL.H.* 241.

[4] Lloyd, *H.W.* 166; Chadwick, *Growth of Lit.* 111; Ward, *Rom.* xxii. 510; Powel, *Cy.* v. 315; Rhys, *Celtic Britain*, 143; Baring-Gould a Fisher, *L.B.S.* iii. 183; cf. Phillimore, *Bye-Gones*, 1890, 483, '*Carwinlaw* or *Carwinelow*, and in the medieval surveys of the

nid oes un ystyr ynddynt oni chymerir mai ffurf ar chwedl Myrddin a geir yn *Titus A. xix*. Ni chrybwyllir nac *Arfderydd* na *Gwenddolau* yn y ddwy chwedl Ysgotaidd. Y mae'r enwau hyn naill ai yn ddolen a gydia Fyrddin wrth Lailoken, neu y mae'n wastraff ar amser eu trafod.

Wedi lleoli Arfderydd aeth Skene ymhellach, gan geisio egluro achos y frwydr a ymladdwyd yno. Brwydr oedd hi, eb ef, rhwng Cristnogaeth a Phaganiaeth. Rhydderch oedd arweinydd y Cristnogion, Gwenddolau oedd arweinydd y Paganiaid, a'r fyddin Gristnogol a drechodd. Myn Skene fod traddodiad, fel y'i corfforwyd yn y Trioedd, ym Muchedd Cyndeyrn, ac mewn mannau eraill, o blaid ei ddamcaniaeth, a bod yr achau yn ei chadarnhau.[1] Y mae'n ddamcaniaeth ddiddorol eithr nid yw'r traddodiadau y seilir hi arnynt yn dystiolaeth hanesyddol o'r radd flaenaf.[2] Nid oes ofod i drafod y pwnc yma eithr y mae'n bur sicr fod i frwydr Arfderydd le pwysig, nid yn unig yn hanes Cymry'r Gogledd, ond hefyd mewn chwedloniaeth a llenyddiaeth Gymraeg gynt. Os oes coel i'w roi ar gymhariaeth rhwng y Trioedd Cymraeg a'r chwedlau Gwyddeleg ynghylch brwydr Magh Rath, gallwn yn gyfreithlon dybio bod ar un adeg gyfres o chwedlau am y gwŷr a ymladdodd yn Arfderydd ac am achosion a chanlyniadau'r frwydr honno. Un peth a ddigwyddodd ynddi, ymhlith llawer o bethau eraill, oedd gwallgofrwydd Myrddin. Ymhen amser magodd Myrddin, fel daroganwr, urddas mawr, a gwelodd y beirdd destun ysblennydd i farddoniaeth yn ei ddioddefiadau. Erbyn heddiw collwyd y chwedlau eraill a chadwyd peth, o leiaf, o'r canu i Fyrddin.

Yng Nghymru y datblygwyd y canu hwn. Yn Sgotland diogelwyd y stori gysefin, neu ran ohoni, mewn rhyddiaith. Hyd y gwyddom ni chynhwyswyd hanes Myrddin erioed mewn cyfarwyddyd ryddiaith Gymraeg. Yn y ffurfiau Gwyddeleg, *Cath Muighe Rath* a *Buile Suibhne*, ceir caneuon tebyg i'r *Afallennau* a'r *Hoianau* yng nghanol stori mewn rhyddiaith, a buom oll yn ddiweddar yn astudio eglurhad yr Athro Ifor Williams ar yr englynion a olygodd ef dan y teitl *Canu Llywarch Hen*, sef mai caneuon ydynt hwythau a godwyd ac a gadwyd o hen chwedlau rhyddiaith sydd erbyn hyn wedi diflannu. Eithr y mae gwahaniaeth rhwng Canu Myrddin a Chanu Llywarch Hen. Brud yw Canu Myrddin gan mwyaf, fel y'i diogelwyd yn y llawysgrifau, ac fel canu brudiol ni allesid erioed ei gynnwys

forest of Liddel *Caerwyndlo*, which in modern Welsh would be *Caer Wenddolau*.' Hawlia Glennie, *Arthurian Localities*, 68–70, iddo leoli'r mannau hyn yn annibynnol ar Skene. Wfftia Lot, op. cit. 42, ar y llaw arall, at y lleoliadau uchod.

[1] Gw. *Celtic Scotland*, i. 156.

[2] Gw. sylwadau gochelgar Lloyd, *H.W.* 166. Cf. trafodaeth Watson, op. cit. 127–9, ar hanes y Gogledd yn y cyfnod 400–600, O.C.

mewn hen chwedlau. Canu chwedlonol pur yw Canu Llywarch Hen yn union fel y caneuon am Suibhne yn y chwedlau Gwyddelig. Y mae'r *Afallennau* a'r *Hoianau* ac yn enwedig y *Cyfoesi* a'r *Wasgargerdd* wedi datblygu ymhell iawn oddi wrth y patrwm cyntefig a ddangosir yn y *Cath Muighe Rath* a'r *Buile Suibhne,* os lluniwyd hwy erioed ar y patrwm hwnnw. Trowyd y ddawn broffwydo a roed i Fyrddin wedi Arfderydd, ac a erys yn elfen yn y chwedlau Sgotaidd, yn foddion propaganda gwleidyddol ac yn gyfrwng i ddiogelu traddodiad gwladol dan law'r beirdd yng Nghymru.

Dichon fod pob atgof am berthynas rhwng Canu Myrddin yng Nghymru a hanes Lailoken yn Sgotland wedi darfod am gyfnod hir. Anodd yw dweud pa bryd y daethpwyd i'w cysylltu â'i gilydd drachefn. Ceir cytundeb cyffredinol ymysg ysgolheigion fod y chwedlau am Lailoken ymhlith ffynonellau Sieffre o Fynwy pan gyfansoddodd y *Vita Merlini,* a chred pob ysgolhaig sy'n llwyr gyfarwydd â'r caneuon Cymraeg eu bod hwythau hefyd ymhlith ei ffynonellau. Y mae'n eglur fod y sawl a sgrifennodd hanes Lailoken yn *Titus A. xix* yntau o'r farn mai'r un person oedd Myrddin a Lailoken, eithr gallai hynny fod yn gynnyrch dylanwad y *Vita Merlini.*

Fe erys i ni drafod yr enw *Lailoken* (*Laloecen, Laloicen*) a'r ffurfiau Cymraeg *llallawg, llallogan.* Ni allaf eu hesbonio ac ni feiddiaf honni'n groyw mai'r un gair ydynt. Ymddengys mai Thomas Price (Carnhuanawc) oedd y cyntaf o'r beirniaid diweddar i gysylltu *Lailoken* â Myrddin ac â'r gair *llallogan.* Yn ei *Hanes Cymru,* 208–9, cyfieitha *llallogan* fel 'brawd gefell' a 'gefell', a dywed fod y 'gair *Laloicen* neu *Lailoken* . . . wedi ei gymmeryd oddiwrth y Cymraeg *Llallogan*'.[1] Dilynwyd ef gan Stephens, *Lit. Kymry,* 220, a dyfynnir ei esboniad gan Skene yn *F.A.B.* ii. 424.

Medd Ward am *llallogan*:

> I have been assured, on very high authority, that the interpretation of '*llallogan*' as *twin-brother* is probably not much older than the *Dictionary* of Owen Pughe (1793).—*Rom.* xxii. 512.

Y mae, o leiaf, agos i ganrif yn hŷn na hynny. Rhydd Lhuyd:

> *Llallog.* q. whether a twin.—*Arch. Brit.* 237.

Gwahanol iawn yw ystyron y geirfâu:

> *Llallogan*: arglwydd.—*Cy.* ix. 332.
>
> *Llallog*: urddas.—*B.* ii. 146.

Rhydd geirfa Wiliam Llŷn:

> *Llallog, llallawg*: anrhydedd.—*B.W.Ll.* 280.

[1] Gw. hefyd *Lit. Remains,* i. 143.

Yng ngeiriadur Davies ceir:

*Llallawg* & *Llallog*, Honor, ait G.T.,

a noda'r ffurf *llallogan* heb ei chyfieithu.

Rhydd Richards (1753):

*Llallawg*, and *llallog*, honour, saith G.T. But Q. whether a twin, as E. Lhwyd thinks.

Yna Thomas Jones (1777):

*Llallog*, *llallawg*, anrhydedd, honour.

*Llallogan*, gwradwydd o'r tu ôl, a back-biting.

Fe sylwir nad oedd na Lhuyd na Richards yn sicr o'r ystyr 'twin'. Ni theimlai Pughe unrhyw betruster. Cysylltodd y gair â *llall*:

*Llallawg*, a. (*llall*) Being other; being fellow, or accompanying part . . . another that is twin.

*Llallogan*, s.c. (*llallawg*) Another that accompanies, a fellow, or comrade; a twin.

Ychwanega ffurf ddychmygol *llallogen*, 'A female other one; a twin sister'.

Ceir ffurfiau tebyg mewn Llydaweg a Gwyddeleg. Galwodd Ward sylw yn *Rom*. xxii. 511, at yr enwau Llydaweg:

*Lalocant*.

*Lalocan*, donator villae Trebinhoi in Siz.

Ceir hwy yn y *Redon Cartulary*, 125; 363. Gw. hefyd Loth, *Chrest. Bret.* 143. Mewn Gwyddeleg ceir y ffurfiau a ganlyn:

*Lallócc* oSenliuss.

Ocus arroerachair Patraic Ard Senlis, ubi posuit *Lallócc* sanctam.

Et uenit Patricius in Ardd Senlis, et posuit (in illo sanctam filiam L)*alocam*, et tenuit locum in campo Nento.

Eiche ocus *Lallóc* o Ṡenlus Iarmbadbgnu na di chaillig.

Enw ar ferch yw'r rhain i gyd. Ceir hwy yn y *Tripartite Life of St. Patrick*, *Rolls*, 82, 104, 317, 550. Ym Muchedd Berach hefyd digwydd y frawddeg a ganlyn:

7 is íad sin muinter *Cille Lallóg*.[1]

Cefais farn yr Athro Tomas O Máille, o Brifysgol Galway, trwy Mr. Máirtín Ua Flaithbheartaigh, mai benthyciad o Gymraeg, yn ôl pob tebyg, yw'r ffurf Wyddeleg *Lallóc*.

[1] Plummer, *Lives of Irish Saints*, i. 38. Cf. ibid. ii. 368, '*Cell Lallóg*, the Church of Lallóc; Hogan gives C. Lalocc "in Connacht in Branan's country", I do not know where Branan's country is; in *Fél*. p. 68 is a virgin Lallóc "of Senlis behind (i.e. to the W. of) Slieve Baune".'

Rhydd Forbes, *Kent.* 371, yr awgrym a ganlyn fel esboniad ar *Laloecen*, er ei fod yn ystyried mai ei gysylltu â *llallogan* a'i hesbonia'n fwyaf boddhaol:

> It might at first sight seem that this name for Merlin was a form of *Lulach*. Of Lulach,[1] the son-in-law of Macbeth, Fordun writes: 'Nomine Lulach ignomine fatuus.' *Luailach* in old Gaelic is 'mimicus, gesticulosus'—Hailes's *Annals*, vol. i. p. 4; ed. 1779.

Cf. Macdonald & Co., *Gaelic Dict.*, 1902– , *luailleach*, 'Mimic, Buffoon'; *luailleach*, *-aiche*, a. 'Mimicking, full of gestures'.

Ceir digon o enghreifftiau o'r enw priod *Lulach*.[2] Gw. Skene, *Fordun*, i. 205, *Lulath, cognomine fatuum*; *Chron. Picts and Scots*, 152, 175, 289, *Lulach fatuus*; 206, *Lulach le fole*; 302, *Dulach fatuus*; Anderson, *Early Sources of Scottish History*, i. cxl, *Luluch, Lulach, Lulac, Dulach, Lusach, Luchlach, Luthlach, Gulak, Lughlaigh* (gen.); ibid. 603, *Lulach fatuus*, a gw. ymhellach y mynegai; Anderson, *Scottish Annals from English Chroniclers*, 3, 86, 100, *Lulach*.

Cf. hefyd Lawrie, *Early Scottish Charters*, 2, *Luloeg*; 225, *Maelsnechta mac Lulaig*. Yng Nghronicl Ulster (*Chron. Picts and Scots*, 370) ceir y ffurf fel *Maelsnectai mac Lulaigh*.

Dylid ystyried yr enwau hyn gyda chryn betruster.[3] Pe cymerem fod *Laloecen* yn tarddu o ryw ffurf ar *Lulach*, gyda *Lailoken* yn ddiweddariad pellach, fe ddichon y gweddai yr ystyr yn burion eithr ni byddai ein hanawsterau ar ben. Ar wahân i anawsterau seinyddol byddai'n rhaid esbonio, os yw *Lulach* yn enw Gaeleg, paham y ceir enw Gaeleg ar brif gymeriad cangen o chwedl y gŵr gwyllt yn y coed sydd yn drwyadl Frythonig ei chefndir a'i chysylltiadau, ac sydd yn amlwg yn perthyn yn llawer nes i'r ffurfiau Cymreig arni nag i'r ffurfiau Gwyddelig. A beth wedyn a ddywedem am y geiriau Cymraeg *llallawg, llallogan*?

Gwell yw peidio â datgan barn yn rhy bendant ar hyn o bryd. Pe gellid profi'n bendant nad oes unrhyw berthynas rhwng *Lailoken* a *llallogan*[4] fe fyddai'n sicr yn gyd-ddigwyddiad tra hynod eu cael fel enwau ar brif gymeriad dwy gangen o'r un chwedl. Ar y llaw arall os tybiwn mai'r un gair ydynt rhaid i ni wynebu amryw anawsterau. Ni wyddom beth yw ystyr *llallogan*, ac os cysylltir ef â *llall* anodd yw gweld ei bwynt fel enw ar Fyrddin. Ni chafwyd enghraifft o'i ddehongli fel 'gefell' gan neb o flaen

[1] Bu farw yn 1058; gw. Anderson, *Early Sources of Scottish History*, i. 603.

[2] Cf. *Lib. Land.* 210–11, *lulic*; *luling*.

[3] Cf. awgrym Lot, op. cit. 16, 'Il est impossible de ne pas songer à rapprocher Lailoken du Loki scandinave, dont le plaisir est de railler les dieux . . . .'

[4] Fel y myn De Jubainville, *R.C.* xv. 240.

Lhuyd, ac nid oes unrhyw dystiolaeth mai gefeilliaid oedd Myrddin a Gwenddydd. Mwy na hynny ni sonnir gymaint ag unwaith am Wenddydd yn yr hanesion am Lailoken.

Anhawster arall yw gwybod pa fodd i rannu'r gair, pa un ai *llallo-gan* ynteu *llallog-an*. Awgrymir yr ail gan y ffurf Wyddeleg *Lallóc*, eithr os derbynnir *llallo-gan* fel rhaniad cywir, yna nid bachigyn yw a byddai'n rhaid esbonio *llallawg* fel adffurfiad.

*Laloecen* (*Laloicen*) yw'r ffurf Ysgotaidd hynaf, er mai unwaith yn unig y digwydd. Gellid, efallai, ei chysylltu â *llallawg* trwy gymharu'r ffurf Gymraeg gynnar *Dinoot*, *W.G.* 94, lle cynrychiola'r *oo* y sain a gafwyd cyn i *ā* ddatblygu'n *aw*. Ni ddylid, wrth gwrs, anwybyddu'r posibilrwydd fod camgymeriadau neu lurguniadau wedi effeithio ar y ffurfiau yn y chwedlau Lladin.

Os bu perthynas erioed rhwng y geiriau *llallogan* a *Lailoken*, rhaid bod y gair Cymraeg wedi colli ei gysylltiadau arbennig yn bur gynnar. Disgwylid mai mewn perthynas â Myrddin yn unig y defnyddid ef, eithr yng Nghanu Llywarch Hen fe'i ceir mewn cysylltiadau eraill. Byddai'n rhaid tybio naill ai fod enw priod yn Sgotland wedi troi'n enw cyffredin yng Nghymru, neu fod enw cyffredin Cymraeg wedi troi'n enw priod Ysgotaidd.

Bangor. A. O. H. JARMAN.